# Gweddiau a Diolwch ar amryw achosion, iw arfer o flaen y ddwy Weddi ddiwaethaf o'r Letani, neu ar y Foreuol a'r Bryd-nhawnol Weddi.

## GWEDDIAU.

¶ *Am Law.*

O Dduw nefol Dâd, yr hwn drwy dy Fâb Iesu Grist, a addewaist i bawb a geisiont dy Deyrnas a'th gyfiawnder, bob peth angenrheidiol iw cynhaliaeth corphorol: danfon i ni wrth ein hangenoctid, ni a attolygwn i ti, gyfryw dywydd a chafodydd ardymherus, modd y gallom dderbyn ffrwythau y ddaiar, i'n mwynant ni, ac i'th urdduniant titheu, trwy Iesu Grist ein Harglwydd, Amen.

¶ *Am Dywydd têg.*

Holl-alluog Arglwydd Dduw, yr hwn am bechod dyn a fôddaist unwaith yr holl fŷd, oddieithr wyth-nŷn o bobl, ac yn ôl hynny o'th fawr drugaredd a addewaist na's destrywit felly byth drachefn, yn ostyngedic, ni a attolygwn i ti, er i ni am ein anwireddau haeddu plâ o law a dyfroedd, etto wrth ein gwîr edifeirwch, danfon i ni y cyfryw dowydd a hinon, fel y gallom dderbyn ffrwythau yr ddaiar mewn amser dyladwy, a dyscu trwy dy gospedigaeth wellhau ein bucheddau, ac am dy warder roddi i ti foliant a gogoniant, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

¶ *Ar amser drudaniaeth a newyn.*

O Dduw Tâd o'r Nef, drwy ddawn pa vn y discyn y glaw, y mae y ddaiar yn ffrwythlawn, yr hilia anifeiliaid, ac yr amlhâ yr pyscod: edrych, attolwg, ar adfyd dy bobl, a chaniadhâ am y prinder ar drudaniaeth ydd ŷm ni yr awrhon yn ei ddioddef, yn gwbl gyfion am ein anwiredd, iddo drwy dy drugarog ddaioni di, ymchwelyd yn rhâd ac yn helaethrwydd, er cariad Iesu Grist ein Harglwydd, i'r hwn gyd â thydi a'r Yspryd glân, y bo anrhydedd a gogoniant, yn oes oesoedd. Amen.

¶ *Neu hon.*

O Dduw Drugarog Dâd, yr hwn yn amser Eliseus y Prophwyd, a droaist yn ddisymmwth y prinder a'r Drudaniaeth yn Samaria yn helaethrwydd a Rhâd, Cymmer drugaredd arnom, fel y bo i ni, y rhai am ein pechodau a boenir yr awrhon â'r cyffelyb adfyd, dderbyn yr unfath brydol gymmorth: Trwy dy nefol fendith, pâr gynnyrch ar ffrwythau y ddaiar, a chaniadhâ fod i ni sy'n derbyn dy haelionus lawnder, arferu yr unrhyw i'th ogoniant di; i gymmorth eraill y sy'n dwyn eisieu, ac i'n diddanwch ein hunain, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

¶ *Ar amser Rhyfel a therfyscau.*

Holl-alluog Dduw, Brenin yr holl Frenhinoedd, a phen-llywiawdr pob peth, yr hwn ni ddichon neb creadur wrthladd ei nerth, i'r hwn y perthyn o gyfiawnder gospi pechaduriaid, a bod yn drugarog wrth y rhai a fyddont wîr edifeiriol: Cadw a gwaret nyni, yn ostyngedic ni attolygwn i ti, rhag dwylaw ein gelynion, gostwng eu balchder, tôla eu drygioni, a gwradwydda eu bwriadau, modd y gallom yn arfogion gan dy amddeffyn di, fod byth yn gadwedic rhag pob perygl, i'th ogoneddu di yr hwn wyt unic rodd-wr pob buddugoliaeth a goruchafiaeth, drwy haeddedigaethau dy un Mâb Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

¶ *Yn amser plâ cyffredin, neu glefyd.*

Holl-alluog Dduw, yr hwn yn dy lîd yn yr anialwch a anfonaist blâ ar dy bobl dy hun, oblegid eu gwarsythni a'u gwrthryfel yn erbyn Moses ac Aaron, ac hefyd yn amser y Brenin Dafydd y leddaist a phlâ a nodau ddengmil a thrugainmil, ac yn y man gan gofio dy drugaredd a faddeuaist i'r lleill: Trugarhâ wrthym wîr bechaduriaid, y rhai y darfu i ddirfawr haint a marwolaeth ymweled a ni, fel megis y pryd hynny y derbyniaist gymmodaeth, ac y gorchymynaist i'th Angel beidio a chospi, felly bod yn awr yn deilwng gennit wrthladd oddiwrthym y blâ a'r gohdus haint yma trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

¶ *Yn wythnos y Cyd-coriau iw dywedyd bob dydd, tros y rhai a fyddant i dderbyn urddau Cyssegredic.*

Holl-alluog Dduw, ein Tâd nefawl, yr hwn a brynaist it Eglwys gyffredinol, trwy werthfawr waed dy anwyl Fâb, Edrych yn ddarbodus ar yr unrhyw; ac ar hyn o amser cyfarwydda a llywia feddyliau dy weision yr Escobion a Bugeiliaid dy braidd, fel na ddodant ddwylo yn ebrwydd ar nêb, eithr bod iddynt ddewis yn ffyddlawn ac yn bwyllog rai cymmwys i wasanaethu yn fanctaidd wenidogaeth dy Eglwys. A dyro o'th Râs a'th fendith nefawl i'r sawl a urdder i bob swyddyddiaeth fanctaidd-lân, fel y bo iddynt trwy eu buchedd ai hathrawiaeth osod allan dy ogoniant, ac hyfforddio iachydwriaeth pawb oll, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

¶ *Neu hyn.*

Holl-alluog Dduw, rhoddwr pob dawn daionus, yr hwn o'th Dduwiol ddarbodaeth a osodaist amrafael Raddau yn dy Eglwys, Ni attolygwn yn ufydd i ti, roddi o'th

Râs

Râs i'r sawl oll a alwer i bob swydd a Gweinyddiaeth yn yr unrhyw ; ac felly cyflawna hwynt a'th wir athrawiaeth, a chynyscaedda hwynt a diniweidrwydd buchedd, fel y gwasanaethont yn ffyddlon ger dy fron, i ogoniant dy ddirfawr Enw, ac er llês i'th Eglwys sanctaidd, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

¶ *Gweddi tros oruchel Lŷs y Parliament, iw dywedyd tra fônt yn eistedd.*

O Dduw grasusaf, yn ufudd attolygwn i ti, megis tros y Deyrnas hon yn gyffredinol, felly yn enwedic tros yr uchel Lŷs Parliament yngynnulledic yr awr hon tan ein duwiolaf a'n grasusaf Arglwydd Frenhin; Deilyngu o honot lywio a llwyddo eu holl ymgynghoriadau er derchafiad i'th ogoniant, er daioni i'th Eglwys, ac er diogelwch, anrhydedd a llwyddiant i'n Harglwydd Frenhin, a'i Deyrnasoedd: Trwy eu llafur hwy felly trefner a gwastattâer pob peth ar y sail oreu a chadarnaf, fel y bo Heddwch a Dedwyddwch, Gwirionedd a Chyfiawnder, ffydd a Duwioldeb yn sefydlog, yn ein plith trwy'r holl Genhedlaethau. Hyn a phob peth arall anghenrhaid iddynt hwy, i ni, ac i'th Eglwys ôll, yddym yn ostyngedic yn eu herfyn yn Enw a chyfryngdod Iesu Grist ein Harglwydd a'n Iachawdr bendigedig. Amen.

¶ *Colect neu Weddi tros bob stât o ddynion iw harfer pan na bo pwyntiedig dywedyd y Letani.*

O Arglwydd, Creawdr a Cheidwad pob dŷn, yn ostyngedig attolygwn i ti tros bob stât a grâdd o ddynion, ar fod yn wiw gennit ysbysu iddynt dy ffyrdd, dy iechydwriaeth i'r holl Genhedloedd. Yn bennaf erfynniwn arnat tros lwyddiannus stât yr Eglwys Gatholic, fel gan gael ei harwain a'i llywio gan dy yspryd grasusol, y caffo pawb yn eu proffessu, ac yn eu galw eu hunain yn Gristianogion eu tywys ar hŷd ffordd y gwirionedd, a chynnal y ffydd mewn undeb ysbryd, rhwymyn tangnheddyf ac uniondeb buchedd. Yn ddiweddaf, ni a orchymynnwn i'th Dadawl ymgeledd y rhai oll a gystuddir mewn un modd, neu sydd yn gyfyng arnynt mewn meddwl, corph neu stât [ * *yn enwedig y sawl tros pa rai y dymunir ein gweddiau* ] ryngu bodd i ti eu diddannu, a'u cymmorth, yn ôl anghenrheidiau pob un, gan roddi iddynt ammynedd dan eu dioddefiadau, a dedwyddol ymwared o'u holl gystuddiau. A hyn a erfyniwn er mwyn Iesu Grist. Amen.

* *Hyn a ddywedir pan ddymuno neb weddiau y gynnulleidfa.*

¶ *Gweddi a ellir ei dywedyd ar ôl pob un o'r rhai o'r blaen.*

O Dduw, yr hwn biau o naturiaeth a phriodoldeb, drugarhâu yn wastad a maddeu, derbyn ein ufudd weddiau, ac er ein bod ni yn rhwym gan gaethiwed cadwynau ein pechodau, er hynny dattoder ni gan dosturi dy drugaredd, er anrhydedd Iesu Grist ein cyfryng-wr a'n dadleu-wr, Amen.

---

## *Ffurfiau o Dalu diolch.*

¶ *Diolwch cyffredinawl.*

HOll-allnog Dduw, Tâd y trugareddau, yr Ydym ni dy weision annheilwng yn rhoddi i ti ddiolch gostyngeiddiaf a ffyddlonaf am dy hôll ddaioni a'th Drugareddau i ni ac i bob dyn [ * *yn arbennig i'r rhai y sy' yr awr hon yn ewyllysio offrymmu it' eu moliannau a'u diolch am y tosturi a ryglyddaist iddynt yn ddiweddar* ] Ni a'th fendithiwn am ein Creadigaeth, am ein Cadwriaeth, ac am holl fendithion y bywyd hwn. Eithr uwchlaw pob dim am dy anfeidrol gariad ym mhrynedigaeth y bŷd trwy ein Harglwydd Iesu Grist, am y moddion o Râs, ac am obaith Gogoniant. Ac ni attolygwn i ti roddi i ni y cyfryw ddwys ac iawn ymsynniad ar dy holl Drugareddau, fel y bo ein calonnau yn ddiffuant yn ddiolchgar, ac fel y mynegom dy foliant, nid a'n gwefusau yn unig, eithr yn ein bucheddau trwy ymroddi i'th wasanaeth, a thrwy rodio ger dy fron mewn sancteiddrwydd ac uniondeb tros ein holl ddyddiau, trwy Iesu Grist ein Harglwydd, i'r hwn gydâ thydi a'r Yspryd glân bid yr holl anrhydedd a'r gogoniant byth bythoedd. Amen.

* *Dyweder hyn pan fo neb un a weddiwyd trosto yndeisyf talu diolch.*

¶ *Am gael glaw.*

O Dduw ein Tâd nefol, yr hwn drwy dy rasol ragluniaeth wyt yn peri i'r glaw cynnar a'r diweddar ddyscyn ar y ddaiar, fel y gallo ddwyn ffrwyth er mwyniant dŷn: yr ydym ni yn rhoi i ti ostyngedic ddiolch, fod yn wiw gennit wrth ein dirfawr anghenrhaid, ddanfon i ni o'r diwedd law hyfryd ar dy etifeddiaeth, a'i hireiddio pan oedd sych, i'n mawr ddiddanwch ni dy weision anwiw, ac i ogoniant dy sanctaidd Enw, trwy dy drugareddau yn Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

¶ *Am dywydd teg.*

O Arglwydd Dduw, yr hwn yn gyfiawn a'n darostyngaist ni drwy dy ddiweddar blâ o anfeidrol law a dyfroedd, ac yn dy drugaredd a gymmhorthaist ac a ddiddenaist ein heneidiau, drwy y tymmhoraidd â'r bendigedig gyfnewid ymma ar dywydd, Nyni a folianwn ac a ogoneddwn dy sanctaidd Enw dros dy drugaredd hyn, ac a ddatcanwn byth dy drugareddau, o genhedlaeth i genhedlaeth, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

¶ *Am helaethrwydd.*

O Drugarocaf Dâd, yr hwn o'th raslon ddaioni a wrandewaist ddefosionol weddiau dy Eglwys, ac a droaist ein prinder ni a'n drudaniaeth yn rhâd ac yn helaethrwydd: yr ydym yn rhoi i ti ostyngedig ddiolch am dy ragorol haelioni hynny, ac yn attolwg i ti barhau dy garedigrwydd ymma tu ag attom, fel y rhoddo ein tir i ni ei ffrwythau toreithog, i'th ogoniant di a'n diddanwch ninnau, trwy Iesu Grist ein Arglwydd. Amen.

¶ *Am heddwch at ymwared oddiwrth ein gelynion.*

HOll-alluog Dduw, yr hwn wyt gadarn dwr ymddiffyn i'th weision, rhag wyneb ein gelynion; yr ydym ni yn rhoddi i ti foliant a diolch am ein hymwared ni oddiwrth y mawr a'r amlwg beryglon oedd i'n hamgylchu, yr ydym ni yn cydnabod mai dy ddaioni di yw, na'n rhoddwydd ni i fynu yn ysclyfaeth iddynt hwy, ac yn attolwg i ti yn wastadol barhau dy gyfryw drugareddau tu ac attom, fel y gallo yr holl fŷd wybod mai tydi yw ein hachubwr a'n cadarn waredwr ni, drwy Jesu Grist ein Harglwydd, Amen.

¶ *Am Edfryd heddwch cyffredinol gartref.*

TRagywyddol Dduw ein Tâd nefol, yr hwn yn unig wyt yn gwneuthur i ddynion fod yn unfryd mewn tŷ, ac yn gostegu cynddeiriogrwydd y werin angerddol ac afreolus, Ni a fendithiwn dy Enw sanctaidd, Deilyngu o honot lonyddu y cythryfwl terfyscus a gyffrowyd yn ddiweddar yn ein plith: Ac yn ufudd yr attolygwn i ti ganiattau i bob rhai o honom râs i rodio o hyn allan yn ostyngedig i'th orchymynion sanctaidd, a chan fyw mewn buchedd ddistaw a heddychol ymhob duwioldeb a gonestrwydd, i offrymmu yn ddibaid i ti ein haberth o foliant a diolchgarwch am dy drugareddau hyn tuag attom, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

¶ *Am ymwared oddi-wrth blâ y nodau, neu neb ryw glefyd arall,*

O Arglwydd Dduw, yr hwn a'n harchollaist ni am ein pechodau, ac a'n difethaist am ein hanwireddau drwy dy ddiweddar ymweliad gorthrwm ac ofnadwy, ac etto ynghanol dy farnedigaeth a gofiaist dy drugaredd, ac a achubaist ein heneidiau allan o safn angeu: yr ydym ni yn offrwm i'th dadol ddaioni ein hunain, ein heneidiau a'n cyrph, y rhai a waredaist di, i fod yn aberth bywiol i ti, gan foliannu a mawrygu yn wastadol dy drugareddau ynghanol yr Eglwys, trwy Iesu Grist ein Harglwydd, Amen.

¶ *Neu hyn.*

YR Ydym ni yn ostyngedig yn cyfaddef ger dy fron di, ô drugarocca Dâd, y gallasei yr holl gospedigaethau a fygythir yn dy gyfraith, yn gyfiawn ddiscyn arnom ni, o herwydd ein haml drosseddau a chaledwch ein calonnau: Etto gan fod yn wiw gennit o'th dyner drugaredd, ar ein gwan a'n an-nheilwng ymddarostyngiad ni, esmwythau y blâ niweidiol, â'r hwn yn ddiweddar i'n custuddiwyd, ac edfryd llêf gorfoledd ac iechydwriaeth yn ein cyfaneddau: yr ydym ni yn offrwm i'th dduwiol fawredd, aberth moliant a diolch, gan glodfori a mawrygu dy ogoneddus Enw o herwydd dy yngeledd a'th ragddarbodaeth drosom, drwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.



# Y Colectau, Epistolau, a'r Efengylau, A arferir trwy'r Flwyddyn.

¶ *Noda, am y Colect a appwyntir i bob Sul, a Gwyl y bo iddo Noswyl, neu Uchel-wyl, y dywedir ef, ar y gwasanaeth Pryd-nhawnol ar y Noswyl.*

¶ *Y Sûl cyntaf yn Advent.*

*Y Colect.*

HOll-alluog Dduw, dyro râd i nyni i ymwrthod â gweithredoedd y tywyllwch, ac i wisco arfau y goleuni, yn awr yn amser y fuchedd farwol hon, (pryd y daeth dy Fâb Iesu Grist i ymweled â nyni mewn mawr ostyngeiddrwydd) fel y byddo i ni yn y dydd diweddaf, pan ddelo efe drachefn yn ei ogoneddus fawredd, i farnu byw a meirw, gyfodi i'r fuchedd anfarwol, trwyddo ef, yr hwn sydd yn byw, ac yn teyrnasu gyd â thi a'r Yspryd glân, yr awr hon ac yn dragywydd. Amen.

¶ *Y Colect hwn a ddywedir beunydd gid â'r Colectau eraill yn Adfent hyd Nos Nadolig.*

*Yr Epistol.*

Na fyddwch yn nyled nêb o ddim. Rhuf. 13. gwers. 8. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

A Phan ddaethant yn gyfagos i. S. Mat. 21. gwers. 1. hyd wers, 14.

*Yr ail Sûl yn Adfent.*

*Y Colect.*

YGwynfydedic Arglwydd, yr hwn a beraist yr holl Scrythur lân yn scrifennedic er mwyn ein athrawiaeth, a'n addysc ni: Caniadhâ fod i ni yn y cyfryw fodd ei gwrando, ei darllain, ei chwiliaw, a'i dyscu, ac i'n mewn ei mwynhâu, fel y gallom trwy ammynedd a diddanwch dy gyssegredic air,

air, gofleidio ac ymgynnal wrth fendigaid obaith y fuchedd dragywyddol, yr hon a roddaist i ni, yn ein Iachawdr Iesu Grist. Amen.

*Yr Epistol.*

Pa bethau bynnag a. Rhuf. 15.
gwers. 4. hyd wers. 14.

*Yr Efengyl.*

A bydd arwyddion. S. Luc. 21.
gwers. 25. hyd wers. 34.

*Y trydydd Sûl yn Adfent.*

*Y Colect.*

O Arglwydd Iesu Grist, yr hwn ar dy ddyfodiad cyntaf a anfonaist dy gennadwr i baratoi dy ffordd o'th flaen, Caniadhâ i weinidogion a goruchwilwŷr ddirgeledigaethau felly baratoi ac arloesi dy ffordd gan droi calonnau y rhai anufudd i Ddoethineb y Cyfiawn, fel ar dy ail Dyfodiad i farnu'r bŷd i'n caffer yn bobl gymmeradwy yn dy olwg di, yr hwn wyt yn byw ac yn teyrnasu gyda 'r Tâd a'r Yspryd glân byth yn un Duw heb drangc na gorphen. Amen.

*Yr Epistol.*

Felly cyfrifed dŷn. 1 Cor. 4.
gwers. 1. hyd wers. 6.

*Yr Efengyl.*

Ac Ioan, pan glybu. S. Matth. 11.
gwers. 2. hyd wers. 11.

*Y pedwerydd Sûl yn Adfent.*

*Y Collect.*

Dercha Arglwydd, attolwg i ti dy gadernid, a thyred i'n plith, ac â mawr nerth cymmorth ni, fel gan fod arnom, O herwydd ein pechodau a'n hanwiredd, ddirfawr luddias a rhwystr i redeg yr yrfa a osodir o'n blaen, bydded i'th ddaionus Râd ti ein gwared ni yn ebrwydd trwy ddiwygiad dy Fâb a'n Harglwydd, i'r hwn gydâ thi a'r Yspryd glân y byddo anrhydedd a gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

*Yr Epistol.*

Llawenhewch yn yr Arglwydd yn wastadol; Phil. 4. gwers. 4. hyd wers. 8.

*Yr Efengyl.*

Hon yw tystiolaeth Ioan. Ioan. 1.
gwers. 19. hyd wers. 29.

*Genedigaeth ein Harglwydd neu Dydd Natalic Crist.*

*Y Colect.*

Holl-alluog Dduw, yr hwn a roddaist i ni dy unig anedig Fâb i gymeryd ein anian arno, iw eni ar gyfer i'r amser yma o forwyn bûr; Caniadhâ i ni fod wedi ein hadgenhedlu, a'n gwneuthur yn blant i ti trwy fabwys a rhâd, a pheunydd ein hadnewyddu trwy dy lân Yspryd, trwy yr un-rhyw ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn sydd yn byw ac yn teyrnasu gyd â thi a'r un-rhyw Yspryd byth yn un Duw yn oes oesoedd. Amen.

*Yr Epistol.*

Duw, wedi iddo lefaru lawer. Heb. 1.
gwers. 1. hyd wers. 13.

*Yr Efengyl.*

Yn y dechreuad yr oedd y Gair. S. Joan. 1.
gwers. 1. hyd wers. 15.

*Dydd gwyl Sanct Stephan.*

*Y Colect.*

Caniadhâ i ni O Arglwydd, yn ein holl ddioddefiadau ymma ar y ddaiar, o herwydd tystiolaeth i'th wirionedd di, edrych yn ddyfal tua 'r nef, a thrwy ffydd gael canfod y gogoniant a ddatcuddir, ac yn llawn o'r Yspryd glân, ddysgu caru a bendithio ein herlidwŷr drwy esampl dy gyn-Ferthyr S. Stephan, yr hwn a weddiodd tros ei arteithwŷr arnat ti, O Iesu wynfydedic, yr hwn wyt yn sefyll ar Ddeheu-law Duw i gymmorth y rhai oll y sydd yn dioddef er dy fwyn di, ein unig Cyfryng-wr a'n Dadleu-wr. Amen.

¶ *Yna y canlyn y Colect o'r Natalig, yr hwn a ddywedir yn oestad hyd uchel-wyl Dydd Calan.*

*Yn lle yr Epistol.*

Ac Stephan yn gyflawn o'r Yspryd glân. Act. 7.
gwers. 55. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

Wele yr ydwyf yn anfon attoch. S. Mat. 23.
gwers. 34. hyd y diwedd.

*Dydd Gwyl S. Joan Efangyl-wr.*

*Y Colect.*

Arglwydd trugarog ni a attolygwn i ti fwrw dy ddisclair belydr goleuni ar dy Eglwys, fel y bo iddi wedi ei goleuo gan athrawiaeth dy wynfydedic Apostol ac Efangyl-wr S. Joan, allu rhodio felly yn goleuni dy wirionedd, fel y byddo iddi yn y diwedd ddyfod i oleuni bywyd tragywyddol trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Yr Epistol.*

Yr hyn oedd o'r ddechreuad. 1 Joan. 1.
gwers. 1. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

Yr Iesu a ddywedodd wrth Betr. S. Joan. 21.
gwers. 19. hyd y diwedd.

*Dy'gwyl y Gwirioniaid.*

*Y Colect.*

Holl-alluog Dduw, yr hwn o enau plant bychain, a rhai yn sugno a beraist nerth, ac a wnaethost i blant aflafar dy ogoneddu trwy farw, Marweiddia a lladd bob rhyw anwiredd ynom, a nertha ni â'th Râs fel trwy fuchedd ddiniweid a ffydd ddiyscog hyd angeu y gogoneddom dy enw bendigedig trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Yn lle yr Epistol.*

Ac mi a edrychais, ac wele Oen. Datc. 14.
gwers. 1. hyd wers. 6.

*Yr Efengyl.*

Angel yr Arglwydd. S. Matth. 2.
gwers. 13. hyd wers. 19.

Y Sûl

*Y Sûl gwedi y Natalig.*

*Y Colect.*

HOll-alluog Dduw, yr hwn a roddaist i ni dy vnig-anedig Fâb i gymmeryd ein anian arno, iw eni ar gyfer i'r amser ymma o forwyn bûr: Caniadhâ i ni fod wedi ein hadgenhedlu, a'n gwneuthur yn blant i ti trwy fabwys a rhâd, a pheunydd ein hadnewyddu trwy dy lân Yspryd, trwy yr vnrhyw ein Harglwydd Jesu Grist, yr hwn sydd yn byw ac yn teyrnasu gyd â thi a'r vnrhyw Yspryd byth yn vn Duw yn oes oesoedd. *Amen.*

*Yr Epistol.*

A hyn yr wyf yn ei ddywedyd. Gal. 4.
gwers 1. hyd w. 8.

*Yr Efengyl.*

A genedigaeth yr Iesu Grist oedd. S. Mat. 1.
gwers 18. hyd y diwedd.

*Dydd Enwaediad Christ.*

*Y Colect.*

HOll-alluog Dduw yr hwn a wnaethost i'th wynfydedic Fâb dderbyn enwaediad, a bod yn vfydd i'r Ddeddf er mwyn Dŷn: Caniadhâ i ni iawn enwaediad yr Yspryd, fel y bo i'n calonnau, a'n holl aelodau, wedi eu marwolaethu oddiwrth fydol a chnawdol anwydau, allu ym-mhob rhyw beth vfyddhau i'th wynfydedic ewyllys, trwy 'r vn-rhyw dy Fâb Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Dedwydd yw y gwr nid yw yr. Rhuf. 4.
gwers 8. hyd w. 15.

*Yr Efengyl.*

A bu, pan aeth yr Angelion. Luc 2.
gwers 15. hyd w. 22.

¶ *Yr un Colect, Epistol, ac Efengyl, a gaiff wasanaethu bob dydd ar ôl hyn hyd at yr Ystwyll.*

*Dy'gwyl Ystwyll neu'r Seven-wyl, sef ymddangudd Crist ir Cenhedloedd.*

*Y Colect.*

DVw yr hwn drwy dywysogaeth seren a ddangosaist dy vnig-anedig Fâb i'r Cenhedloedd. Caniadhâ yn drugarog i ni y sawl ydym i'th adnabod yr awr hon drwy ffydd, allu yn ôl y fuchedd hon gael mwyniant dy ogoneddus Dduwdod, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Er mwyn hyn myfi Paul. Ephes. 3.
gwers 1. hyd w. 13.

*Yr Efengyl.*

Ac wedi geni yr Iesu yn. S. Matth. 2.
gwers 1. hyd w. 13.

*Y Sûl cyntaf gwedi'r Ystwyll.*

*Y Colect.*

ARglwydd, nyni a atolygwn i ti dderbyn yn drugarog weddiau dy bobl sydd yn galw arnat: a chaniadhâ iddynt ddeall a gwybod yr hyn a ddylent ei wneuthur, a chael hefyd râd a gallu yn ffyddlon i wneuthur yr un-rhyw, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Am hynny yr wyf yn attolwg. Rhuf. 12.
gwers 1. hyd w. 6.

*Yr Efengyl.*

Rhieni yr Iesu a aent i Jerusalem. S. Luc. 2.
o wers 41. hyd y diwedd.

*Yr ail Sûl gwedi'r Ystwyll.*

*Y Colect.*

HOll-alluog a thragywyddol Dduw, yr hwn wyt yn llywiaw bob peth yn y nef a'r ddaiar, clyw yn drugarog eirchion dy bobl, A chaniadhâ i ni dy dangneddyf holl ddyddiau ein bywyd, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Gan fod i ni amryw ddoniau. Rhuf. 12.
gwers 6. hyd w. 16.

*Yr Efengyl.*

A'r trydydd dydd yr oedd. S. John. 2.
gwers 1. hyd w. 12.

*Y Trydydd Sûl gwedi'r Ystwyll.*

*Y Colect.*

HOll-alluog a thragywyddol Dduw, edrych yn drugarog ar ein gwendid; ac ar ein holl beryglon, a'n anghenion, estyn dy ddeheulaw i'n cymmorth, ac i'n hamddeffyn, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Na fyddwch ddoethion yn eich. Rhuf. 12.
gwers 16. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

Gwedi dyfod yr Iesu i wared. S. Mat. 8.
Gwers 1. hyd w. 14.

*Y pedweryddd Sûl gwedi'r Ystwyll.*

*Y Colect.*

DVw, yr hwn a wyddost ein bod ni wedi ein gosod mewn cymmaint a chynnifer o beryglon, ac nas gallwn o herwydd gwendid dynol, sefyll bob amser yn vniawn: caniadhâ i ni y cyfryw dy nerth a'th nodded i'n cymmorth ymhob perigl, ac i'n harwain trwy bob profedigaeth, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Ymddarostynged pob enaid i'r. Rhuf. 13.
gwers 1. hyd w. 8.

*Yr Efengyl.*

Ac wedi iddo fyned i'r. S. Mat. 8.
gwers 23. hyd y diwedd.

*Y pummed Sûl gwedi'r Ystwyll.*

*Y Colect.*

ARglwydd, ni a attolygwn i ti gadw dy Eglwys a'th deulu yn wastad yn dy wîr

grefydd, fel y gallont hwy oll y sawl sydd yn ymgynnal yn vnic wrth obaith dy nefol râd, byth gael nawdd dy ddiogel amddiffyn, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Megis etholedigion Duw. Col. 3.
gwers 12. hyd w. 18.

*Yr Efengyl.*

Teyrnas nefoedd sydd. S. Mat. 13.
gwers 24. hyd w. 31.

*Y chweched Sul gwedi'r Ystwyll.*

*Y Colect.*

O Dduw, Bendigedig Fâb yr hwn a ymddangosodd, fel y dattodai weithredoedd Diafol, ac y gwnae ni yn feibion i Dduw, ac yn etifeddion bywyd tragywyddol, Caniadhâ i ni, attolygwn i ti, gan fod gennym y gobaith hyn ein puro ein hunain, megis y mae ynteu yn bûr; fel pan yr ymddangoso eilwaith gydâ nerth a gogoniant mawr, i'n gwneler yn gyffelyb iddo ef yn ei dragywyddol a'i ogoneddus deyrnas; Ymha vn gydâ thi, O Dâd, a chydâ thi, O Ysprydd glân, y mae efe yn byw ac yn teyrnasu byth yn vn Duw heb drangc na gorphen. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Gwelwch pa fâth gariad. 1 Ioan. 3.
gwers 1. hyd w. 9.

*Yr Efengyl.*

Yna os dywed nêb. S. Mat. 24.
gwers 23. hyd w. 32.

*Y Sul a elwir Septuagesima, neu y trydydd Sul cyn y Grawys.*

*Y Colect.*

ARglwydd, ni a attolygwn i ti wrando yn ddarbodus weddiau dy bobl, fel y byddo i ni y rhai a gospir yn gyfiawn am ein camweddau, allu yn drugarog gael ein ymwared gan dy ddaioni di, er gogoniant dy Enw, trwy Iesu Grist ein Iachawdwr, yr hwn sydd yn byw, ac yn teyrnasu gydâ thi a'r Ysprydd glân byth, yn vn Duw, heb drangc na gorphen, yn oes oesoedd. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Oni wyddoch chwi fod y rhai. 1 Cor. 9.
gwers 24. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

Teyrnas nefoedd sydd. S. Mat. 20.
gwers 1. hyd w. 17.

*Y Sul a elwir Sexagesima, neu'r ail Sul cyn y Grawys.*

*Y Colect.*

O Arglwydd Dduw, yr hwn a weli nad ydym ni yn ymddiried mewn vn weithred a wnelom: Caniadhâ yn drugarog fod i ni drwy dy nerth, gael ein amddeffyn rhag pob gwrthwyneb, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Yr ydych yn goddef. 2 Cor. 11.
gwers 19. hyd w. 32.

*Yr Efengyl.*

Gwedi i lawer o bobl. S. Luc 8.
gwers 4. hyd w. 16.

*Y Sul a elwir Quinquagesima, neu'r Sul nesaf o flaen y Grawys.*

*Y Colect.*

O Arglwydd, yr hwn a ddyscaist, na thâl dim ein holl weithredoedd a wnelom heb gariad perffaith; anfon dy Ysprydd glân, a thywallt yn ein calonnau ragorol ddawn cariad-perffaith, gwîr rwymyn tangneddyf, a holl rinweddau da, heb yr hwn pwy bynnac sydd yn byw a gyfrifir yn farw ger dy fron di, Caniadhâ hyn er mwyn dy vn Mâb Iesu Grist. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Pe llefarwn â thafodau. 1 Cor. 13.
gwers 1. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

Yr Iesu a gymmerodd y. S. Luc 18.
gwers 31. hyd y diwedd.

*Y Dydd cyntaf o'r Grawys, yr hwn a elwir yn gyffredin Dydd Merchur y Ludw.*

*Y Colect.*

HOll gyfoethog a thragywyddol Dduw, yr hwn ni chashei ddim a'r a wnaethost, ac a faddeui bechodau pawb y sy edifeiriol; crêa a gwna ynom newydd a drylliedig galonnau; fel y bo i ni gan ddyledus ddoluriaw am ein pechodau, a chyfaddef ein trueni, allu caffael gennit, Dduw yr holl drugaredd, gwbl faddeuant a gollyngdod, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

¶ *Y Colect hwn a ddarllenir bob dydd o'r Grawys ar ôl y Colect, a appwyntir i'r Diwrnod.*

*Yn lle yr Epistol.*

Dychwelwch attafi â'ch. Joel. 2.
gwers 12. hyd w. 17.

*Yr Efengyl.*

Pan ymprydioch, na fyddwch. S. Mat. 6.
gwers 16. hyd w. 21.

*Y Sul cyntaf yn y Grawys.*

*Y Colect.*

O Arglwydd, yr hwn er ein mwyn a ymprydiaist ddeugain nhiwrnod, a deugain nhôs, dyro i ni râd i ymarfer o gyfryw ddirwest, fel y byddo i ni gan ostwng ein cnawd i'r Ysprydd, byth vfyddhau i'th dduwiol annog, mewn iawnder a gwîr sancteiddrwydd, i'th anrhydedd, a'th ogoniant, yr hwn wyt yn byw, ac yn teyrnasu, gyd â'r Tâd, a'r Ysprydd glân yn vn Duw, heb drangc na gorphen. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Nyni gan gydweithio, ydym. 2 Cor. 6.
gwers 1. hyd w. 10.

*Yr Efengyl.*

Yna yr Iesu. S. Mat. 4.
gwers 1. hyd w. 11.

Yr

*Yr ail Sûl o'r Grawys.*

*Y Colect.*

HOll-alluog Dduw, yr hwn wyt yn gweled nad oes gennym ddim meddiant o'n nerth ein hunain i'n cymmorth ein hunain: cadw di ni oddi-fewn ac oddi-allan, sef enaid a chorph fel yr amddeffyner ni rhag pob gwrthwyneb a ddigwyddo i'r corph, a rhag pob drwg feddwl a wnâ niwed na chynnwrf i'r enaid, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Ym-mhellach gan hynny. 1 Thes. 4.
gwers 1. hyd w. 8.

*Yr Efengyl.*

A'r Iesu a aeth. S. Mat. 15.
gwers 21. hyd w. 18.

*Y trydydd Sûl o'r Grawys.*

*Y Colect.*

NI a attolygwn i ti, Holl-alluog Dduw, edrych o honot ar ddeisyfiadau dy ufydd weision, ac estyn ddeheu-law dy fawredd i fod yn ymwared i ni yn erbyn ein gelynion, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Byddwch ddilynwŷr Duw. Ephes. 5.
gwers 1. hyd w. 14.

*Yr Efengyl.*

Ac yr oedd efe yn. S. Luc. 11.
gwers 14. hyd w. 48.

*Y pedwerydd Sûl o'r Grawys.*

*Y Colect.*

CAniadhâ, ni attolygwn i ti Holl-alluog Dduw, fod i ni y rhai a haeddasom gael ein poeni am ein drwg weithredoedd, trwy gonffordd dy râd ti, allu yn drugarog gael hawshâd, trwy ein Harglwydd a'n iachawdwr Iesu Grist. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Dywedwch i mi. Gal. 4.
gwers 21. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

Yr Iesu a aeth. S. Ioan 6.
gwers 1. hyd w. 14.

*Y pummed Sûl o'r Grawys.*

*Y Colect.*

NI attolygwn i ti Holl-alluog Dduw, edrych o honot yn drugarog ar dy bobl: fel y bo iddynt trwy dy fawr ddaioni, gael byth eu llywodraethu a'u cadw mewn enaid a chorph, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Crist wedi dyfod. Hebr. 9.
gwers 11. hyd w. 15.

*Yr Efengyl.*

Pwy o honoch. S. Ioan 8.
gwers 46. hyd w. 56.

*Y Sûl nesaf o flaen y Pasc.*

*Y Colect.*

HOll-gyfoethog a thragywyddol Dduw, yr hwn o'th garedigol serch at ddyn, a ddanfonaist dy Fâb ein Iachawdr Iesu Grist i gymmeryd arnaw ein cnawd, ac i ddioddef angeu ar y groes, fel y gallai bob rhyw ddyn ddilyn esampl ei fawr ostyngeiddrwydd ef; Caniadhâ o'th drugaredd fod i ni ganlyn esampl ei ddioddefaint, a bod yn gyfrannogion o'i gyfodiad, trwy yr vnrhyw Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Bydded ynoch y. Phil. 2.
gwers 5. hyd w. 12.

*Yr Efengyl.*

A phan ddaeth y boreu. S. Mat. 27.
gwers 1. hyd w. 55.

*Dydd llun nesaf o flaen y Pasc.*

*Yn lle yr Epistol.*

Pwy yw hwn. Isa. 63.
gwers 1. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

Ac wedi deu-ddydd. S. Marc 14.
gwers 1. hyd y diwedd.

*Dydd mawrth nesaf o flaen y Pasc.*

*Yn lle yr Epistol.*

Yr Arglwydd Dduw a. Esa. 50.
gwers 5. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

Ac yn y fan. S. Mat. 15.
gwers 1. hyd w. 39.

*Dydd merchur nesaf o flaen y Pasc.*

*Yr Epistol.*

Lle byddo Testament. Hebr. 9.
gwers 16. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

A nessaodd gwyl y. S. Luc 22.
gwers 1. hyd y diwedd.

*Dydd Iou o flaen y Pasc.*

*Yr Epistol.*

Wrth ddywedyd hyn. 1 Cor. 11.
gwers 17. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

A'r holl liaws. S. Luc 23.
gwers 1. hyd w. 50.

*Dydd Gwener y Croc-lith.*

*Y Colectau.*

HOll-alluog Dduw, ni a attolygwn i ti edrych o honot yn rasusol ar dy deulu hwn ymma, tros yr hwn y bu fodlawn gan ein Harglwydd Iesu Grist gael ei fradychu, a'i roddi yn nwylaw dynion anwir, a dioddef angeu ar y groes, yr hwn sydd yn byw ac yn teyrnasu gydâ thydi a'r Yspryd glân, byth yn vn Duw heb drangc na gorphen. *Amen.*

HOll-alluog a thragywyddol Dduw, trwy Yspryd pa vn y llywodraethir ac y sancteiddir holl gorph yr Eglwys, derbyn ein erfynion a'n gweddiau, y rhai yr ydym ni yn

ei

eu hoffrwm ger dy fron di dros bob gradd o ddynion yn dy sanctaidd Eglwys, fel y bo i bob aelod o honi yn ei alwedigaeth a'i wasanaeth, allu yn gywir, ac yn dduwiol dy wasanaethu di, trwy ein Harglwydd a'n iachawdr Iesu Grist. *Amen.*

O Drugarog Dduw, yr hwn a wnaethost bob dŷn, ac ni chashei ddim a'r a wnaethost, ac ni fynnit farwolaeth pechadur, onid yn hytrach ymchwelyd o honaw a byw: trugarhâ wrth yr holl Iddewon, Twrciaid, Anffyddlonion, a Hereticiaid, a chymmer oddi wrthynt bob anwybodaeth, caledwch calon, a thremyg ar dy air, ac felly dwg hwynt adref, wynfydedic Arglwydd, at dy braidd, fel y bônt gadwedic ym-mhlith gweddillion y gwir Israeliaid, a bod yn vn gorlan, dan yr un bugail Iesu Grist ein Harglwydd, yr hwn sydd yn byw ac yn teyrnasu, &c. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Y gyfraith, yr hon. Hebr. 10.
gwers 1. hyd wers 26.

*Yr Efengyl.*

Yna gan hynny. S. Ioan 19.
gwers 1. hyd w. 38.

*Nôs Pasc.*

*Y Colect.*

CAniadhâ, O Arglwydd, megis i'n bedyddir i farwolaeth dy fendigedic Fâb ein Iachawdr Iesu Grist, fod i ni felly trwy farwolaethu yn wastad ein gwyniau llygredic gael ein claddu gydâg ef, a thrwy 'r Bedd a phorth angeu fyned ymlaen, trwy ei haeddedigaethau ef, yr hwn a fu farw, ac y gladdwyd, ac a ail-gyfododd er ein mwyn, sef, dy Fâb Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Gwell ydyw, os. 1 Pet. 3.
gwers 17. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

Wedi ei myned hi yn. S. Mat. 27.
gwers 57. hyd y diwedd.

*Dydd Pasc.*

¶ *Ar Foreuol weddi, yn lle y Psalm,* Deuwch, canwn i'r Arg. &c. *y cenir, neu y dywedir yr Anthemau hyn.*

1 Cor. 5. 7. CRist ein Pasc ni, a aberthwyd trosom ni; Am hynny cadwn ŵyl, nid a hên lefain, nag a lefain malais a drygioni, ond â bara croyw purdeb a gwirionedd.

Rhuf. 6. 9. CRist yn cyfodi o feirw, yr awr hon ni bydd marw: nid arglwyddiaetha angau arno ef mwyach. Canys fel y bu efe farw, efe a fu farw vn-waith i bechod: ac fel y mae yn fyw, byw y mae i Dduw, Felly chwithau hefyd cyfrifwch eich hunain yn feirw i bechod, eithr yn fyw i Dduw, yn Ghrist Iesu ein Harglwydd.

1 Cor. 15. 20. CRist a gyfodwyd oddiwrth y meirw, ac a wnaed yn flaen-ffrwyth y rhai a hunasant. Canys, gan fod marwolaeth trwy ddŷn, trwy ddŷn hefyd y mae adgyfodiad y meirw, Oblegid, megis yn Adda y mae pawb yn meirw; felly hefyd yn Ghrist y bywheir pawb.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân.

*Atteb.*

Megis ydd oedd yn y dechreu, y mae yr awrhon, ac y bydd yn wastad yn oes oesoedd. *Amen.*

*Y Colect.*

HOll-alluog Dduw, yr hwn drwy dy vnig-anedig fâb Iesu Grist, a orchfygaist angeu, ac a agoraist i ni borth y bywyd tragywyddol; yn vfydd yr attolygwn i ti, megis (drwy dy rad yspysawl yn ein hachub) ydd wyt yn peri deisyfiadau da i'n meddyliau: felly trwy dy ddyfal gymmorth, allu o honom eu dwyn i berffeithrwydd cyflawn, trwy Iesu Grist ein Harglwydd, yr hwn sydd yn byw, ac yn teyrnasu gydâ thydi a'r Yspryd glân, byth yn vn Duw heb drangc na gorphen. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Os cyd-gyfodasoch gyd â. Colos. 3.
gwers 1. hyd w. 8.

*Yr Efengyl.*

Y Dydd cyntaf o'r wythnos. S. Ioan 20.
gwers 1. hyd w. 12.

*Dydd Llun Pasc.*

*Y Colect.*

HOll-alluog Dduw, yr hwn drwy dy vnig-anedig fâb Iesu Grist a orchfygaist angau, ac a agoraist i ni borth y bywyd tragywyddol: yn vfydd yr attolygwn i ti, megis (drwy dy râd yspysol yn ein hachub) ydd wyt yn peri deisyfiadau da i'n meddyliau, felly trwy dy ddyfal gymmorth allu o honom eu dwyn i ben da, trwy Iesu Grist ein Arglwydd, yr hwn sydd yn byw, ac yn teyrnasu gydâ thydi a'r Yspryd glân byth yn vn Duw heb drangc na gorphen. *Amen.*

*Yn lle yr Epistol.*

Petr a agorodd ei enau. Act. 10.
gwers 34. hyd w. 44.

*Yr Efengyl.*

Wele, dau o honynt. S. Luc. 24.
gwers 13. hyd w. 36.

*Dydd mawrth Pasc.*

*Y Colect.*

HOll-alluog Dduw, yr hwn drwy dy vnig-anedig fâb Iesu Grist a orchfygaist angau, ac a agoraist i ni borth y bywyd tragywyddol: yn vfydd yr attolygwn i ti, megis (drwy dy rad yspysol yn ein hachub) ydd wyt yn peri deisyfiadau da i'n meddyliau, felly trwy dy ddyfal gymmorth allu o honom eu dwyn i ben da, trwy Iesu Grist ein Arglwydd, yr hwn sydd yn byw, ac yn teyrnasu gydâ thydi a'r Yspryd glân byth yn vn Duw heb drangc na gorphen. *Amen.*

*Yn lle yr Epistol.*

Ha-wŷr frodyr. Act. 13.
gwers 26. hyd w. 42.

Yr

*Yr Efengyl.*

Yr Iesu a safodd. S. Luc 24.
gwers 36. hyd wers 49.

*Y Sûl cyntaf gwedi'r Pasc.*

*Y Colect.*

HOll-alluog Dâd, yr hwn a roddaist dy vn Mâb i farw dros ein pechodau, ac i gyfodi drachefn dros ein cyfiawnhâd: Caniadhâ i ni felly fwrw ymmaith sur-does drygioni ac anwiredd, fel y gallom yn wastad dy wasanaethu di ymhurdeb buchedd a gwirionedd, trwy haeddedigaethau dy vn Mâb Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Beth bynnag a aned. 1 S. Ioan 5.
gwers 4. hyd wers 13.

*Yr Efengyl.*

Yna, a hi yn hwyr. S. Ioan 20.
gwers 19. hyd wers 24.

*Yr ail Sûl yn ôl y Pasc.*

*Y Colect.*

HOll-alluog Dduw, yr hwn a roddaist dy vn Mâb i ni yn aberth tros bechod, a hefyd yn esampl o fuchedd dduwiol, dyro i ni dy râs fel y gallom byth yn ddiolchgar dderbyn ei anhraethawl lesâd ef; a hefyd beunydd ymroi i ganlyn bendigedig lwybrau ei wîr lanaf fuchedd ef trwy yr vn Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Hyn sydd rasol. 1 Pet. 2.
gwers 19. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

Crist a ddywedodd. S. Ioan 10.
gwers 11. hyd wers 17.

*Y trydydd Sûl yn ôl y Pasc.*

*Y Colect.*

HOll-alluog Dduw, yr hwn wyt yn dangos i bawb sy ar gyfeiliorn lewyrch dy wirionedd, er eu dwyn i ffordd cyfiawnder, Caniadhâ i bawb a dderbynier i gymdeithas crefydd Grist, allu o honynt ymogelyd y cyfryw bethau ac y sydd wrthwyneb iw proffess, a chanlyn y sawl bethau oll ac a fyddo yn cydtuno â'r vnrhyw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Anwylyd, yr wyf yn. 1 S. Petr 2.
gwers 11 hyd wers 18.

*Yr Efengyl.*

Yr Iesu a ddywedodd. S. Ioan 16.
gwers 16. hyd wers 23.

*Y pedwerydd Sûl yn ôl y Pasc.*

*Y Colect.*

HOll-alluog Dduw, yr hwn yn vnig a biau lywodraethu afreolus chwantau a gwyniau dynion pechadurus, Caniadhâ i'th bobl, fod iddynt garu yr hyn yr wyt yn ei orchymmyn, a deisyfu yr hyn yr wytyn ei addo, fel ym mhlith amrafael ddamweiniau y byd, allu o'n calonnau gwbl aros yn y lle y mae gwir lawenydd iw gaffael, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Pob rhoddiad daionus. S. Iaco 1.
gwers 17. hyd wers 22.

*Yr Efengyl.*

Yr Iesu a ddywedodd. S. Ioan 16.
gwers 5. hyd wers 15.

*Y Pumed Sûl yn ôl y Pasc.*

*Y Colect.*

ARglwydd, oddi-wrth ba vn y daw pob daioni, caniadhâ i ni dy vfydd weision, allu o honom trwy dy sanctaidd ysprydoliaeth di, feddwl y pethau a fo vnion, a thrwy dy ymgeleddus dywysogaeth eu gwneuthur yn ddibennus, trwy ein Harglwydd Iesu Grist. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Byddwch wneuthur-wŷr. S. Iaco 1.
gwers 22. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

Yn wîr, yn wîr, meddaf. S. Ioan 16.
gwers 13. hyd y diwedd.

*Dydd Iou y Dyrchafael.*

*Y Colect.*

CAniadhâ ni attolygwn i ti Holl-alluog Dduw, megis ac yr ŷm ni yn credu ddarfod i'th vnig-anedic fâb ein Harglwydd Iesu Grist dderchafel i'r nefoedd: felly bod i ninnau â meddyl-fryd ein calon allu ymdderchafel yno, a chyd âg ef drigo yn wastadol, yr hwn sy'n byw ac yn teyrnasu gydâ thi a'r Yspryd glân yn vn Duw, heb drangc na gorphen. *Amen.*

*Yn lle yr Epistol.*

Y traethawd cyntaf a. Act. 1.
gwers 1. hyd wers 12.

*Yr Efengyl.*

Yr Iesu a ymddangosodd. S. Mar. 16.
gwers 14. hyd y diwedd.

*Y Sûl yn ôl dydd y derchafael.*

*Y Colect.*

O Dduw, brenin y gogoniant, yr hwn a dderchefaist dy vn Mâb Iesu Grist â mawr oruchafiaeth i'th deyrnas yn y nefoedd: Attolwg i ti na âd ni yn an-niddan, eithr danfon i ni dy Yspryd glân i'n diddanu, a dyrcha ni i'r vn fan lle yr aeth ein Iachawdr Crist o'r blaen; yr hwn sydd yn byw, ac yn teyrnasu gydâ thi a'r Yspryd glân yn vn Duw, heb drangc na gorphen. *Amen.*

*Yr Epistol.*

Diwedd pôb peth a nesaodd. 1 Pet. 4.
gwers 7. hyd wers 12.

*Yr Efengyl.*

Pan ddêl y Diddanudd. S. Ioan 15.
gwers 26. *a rhan o'r vn Bennod ar bymthec* hyd wers 4.

Y Sûl

*Y Sul-gwyn.*

*Y Colect.*

DVw, yr hwn ar gyfen i'r amser ymma a ddyscaist galonnau dy ffyddlonion, gan anfon iddynt lewyrch dy lân Yspryd: Caniadhâ i nyni trwy yr unrhyw Yspryd, ddeall yr iawn farn ym-mhob peth, a byth lawenychu yn ei wynfydedic ddiddanwch ef, trwy ryglyddau Iesu Grist ein Iachawdr, yr hwn sydd yn byw, ac yn teyrnasu gyd â thi yn undeb yr un-rhyw Yspryd, yn un Duw heb drangc na gorphen. Amen.

*Yn lle yr Epistol.*

Wedi dyfod dydd y Pentecost. Act. 2.
gwers 1. hyd w. 12.

*Yr Efengyl.*

Yr Iesu a ddywedodd. S. Ioan 14.
gwers 15. hyd w. 31.

*Dydd Llun yn wythnos y Sulgwyn.*

*Y Colect.*

DVw, yr hwn ar gyfen i'r amser ymma a ddyscaist galonnau dy ffyddlonion, gan anfon iddynt lewyrch dy lân Yspryd: Caniadhâ i nyni trwy yr unrhyw Yspryd, ddeall yr iawn farn ym-mhob peth, a byth lawenychu yn ei wynfydedic ddiddanwch ef, trwy ryglyddau Iesu Grist ein Iachawdr, yr hwn sydd yn byw, ac yn teyrnasu gyd â thi yn undeb yr un-rhyw Yspryd, yn un Duw heb drangc na gorphen. Amen.

*Yn lle yr Epistol.*

Petr a agorodd ei enau. Act. 10.
gwers 34. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

Felly y carodd Duw y byd. S. Ioan 3.
gwers 16. hyd w. 22.

*Dydd Mawrth yn wythnos y Sulgwyn.*

*Y Colect.*

DVw, yr hwn ar gyfen i'r amser ymma a ddyscaist galonnau dy ffyddlonion, gan anfon iddynt lewyrch dy lân Yspryd: Caniadhâ i nyni trwy yr unrhyw Yspryd, ddeall yr iawn farn ym-mhob peth, a byth lawenychu yn ei wynfydedic ddiddanwch ef, trwy ryglyddau Iesu Grist ein Iachawdr, yr hwn sydd yn byw, ac yn teyrnasu gyd â thi yn undeb yr un-rhyw Yspryd, yn un Duw heb drangc na gorphen. Amen.

*Yn lle yr Epistol.*

Pan glybu yr Apostolion. Act. 8.
gwers 14. hyd w. 18.

*Yr Efengyl.*

Yn wir, yn wir meddaf. S. Ioan 10.
gwers 1. hyd w. 11.

*Sul y Drindod.*

*Y Colect.*

HOll-alluog a thragywyddol Dduw, yr hwn a roddaist i ni dy weision râd gan gyffessu ac addef y wir ffydd, i adnabod gogoniant y dragywyddol Drindod, ac yn nerth y duwiol fawredd i addoli yr undod: Nyni a attolygwn i ti fod i ni trwy y gadernid y ffydd hon, gael ein hamddeffyn oddiwrth bob gwrthwyneb, yr hwn wyt yn byw, ac yn teyrnasu, yn un Duw byth heb ddiwedd. Amen.

*Yn lle yr Epistol.*

Yn ôl y pethau hyn. Datc. 4.
gwers 1. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

Yr oedd dŷn o'r Pharisæaid. S. Ioan 3.
gwers 1. hyd w. 16.

*Y Sul cyntaf gwedi'r Drindod.*

*Y Colect.*

DVw, yr hwn wyt wir nerth i bawb oll ac y sy yn ymddiried ynot, yn drugarog derbyn ein gweddiau: A chan na ddichon gwendid ein marwol anian wneuthur dim da hebot ti, Caniadhâ i ni gymmorth dy râd, fel y bo i ni gan gadw dy orchmynion, ryngu bodd i ti ar ewyllys a gweithred: trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Yr Epistol.*

Anwylyd, carwn ei gilydd. 1 S. Ioan 4.
gwers 7. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

Yr oedd rhyw wr goludog. S. Luc 16.
gwers 19. hyd y diwedd.

*Yr ail Sul gwedi'r Drindod.*

*Y Colect.*

O Arglwydd, yr hwn ni phelli byth gynnorthwyo a llywodraethu y rhai yr ydwyt yn eu meithrin yn dy ddilys ofn a'th gariad, Cadw ni, ni attolygwn i ti, dan dy ddarbodus nodded, a phar i ni yn ddibaid ofni a charu dy Enw bendigedig, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Yr Epistol.*

Na ryfeddwch, fy mrodyr. 1 S. Ioan 3.
gwers 13. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

Rhyw ŵr a wnaeth swpper. S. Luc. 14.
gwers 16. hyd w. 25.

*Y trydydd Sul gwedi'r Drindod.*

*Y Colect.*

ARglwydd ni attolygwn i ti yn drugarog ein gwrando, a megis y rhoddaist i ni feddylfryd calon i weddio, caniadhâ drwy dy fawr nerth i ni gael ein hamddiffyn a'n diddanu ym mhob perigl ac adfyd trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Yr Epistol.*

Byddwch bawb yn ostyngedig 1 S. Pet. 5.
gwers 5. hyd w. 12.

*Yr Efengyl.*

Ac yr oedd yr holl. S. Luc 15.
gwers 1. hyd w. 11.

Y pedwerydd Sul gwedi 'r Drindod.

Y Colect.

O Dduw Nodd-wr pawb oll y sydd yn ymddiried ynot, heb pa un nid oes dim nerthawg, na dim sanctaidd, chwanega ac amlhâ arnom dy drugaredd, fel y gallom (a thi yn llywiawdr ac yn dywysog i ni) dreiddio drwy yr pethau bydol, modd na chollom yn llwyr y pethau tragywyddol: Caniadhâ hyn nefol Dâd, er mwyn Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Yr Epistol.

Yr ydwyf yn cyfrif. Rhuf. 8.
gwers 18. hyd w. 21.

Yr Efengyl.

Byddwch drugarogion. S. Luc. 6.
gwers 36. hyd w. 43.

Y pumed Sul gwedi 'r Drindod.

Y Colect.

Caniadhâ Arglwydd, ni a attolygwn i ti, fod i chwŷl y byd hwn, trwy dy reoledigaeth di gael ei drefnu mor dangneddyfol ag y gallo dy eglwys di dy wasanaethu yn llawen ym mhob duwiol heddwch, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Yr Epistol.

Byddwch oll yn unfryd. 1 S. Pet. 3.
gwers 8. hyd w. 15.

Yr Efengyl.

Bu hefyd a'r bobl yn. S. Luc. 5.
gwers 1. hyd w. 12.

Y chweched Sul gwedi 'r Drindod.

Y Colect.

Duw, yr hwn a arlwyaist i'r rhai a'th garant gyfryw bethau daionus ac y sydd uwch ben pob deall dŷn, tywallt i'n calonnau gyfryw serch arnat, fel y byddo i ni gan dy garu uwch law pob dim, allu mwynhau dy addewidion, y rhai sy fwy rhagorol nâ dim a fedrom ni ei ddeisyf: trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Yr Epistol.

Oni wyddoch chwi. Rhuf. 6.
gwers 3. hyd w. 12.

Yr Efengyl.

Yr Iesu a ddywedodd. S. Mat. 5.
gwers 20. hyd w. 27.

Y Seithfed Sul gwedi 'r Drindod.

Y Colect.

Arglwydd yr holl nerth a'r cadernid, yr hwn wyt Awdur a rhoddwr pob daioni, planna yn ein calonnau gariad dy Enw, ychwanega ynom wir grefydd, Maetha nyni a phob daioni, ac o'th fawr drugaredd cadw ni yn yr un-rhyw, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Yr Epistol.

Yn ôl dull dynol. Rhuf. 6.
gwers 19. hyd y diwedd.

Yr Efengyl.

Yn y dyddiau hynny. S. Marc 8.
gwers 1. hyd w. 16.

Yr viii Sul gwedi 'r Drindod.

Y Colect.

O Dduw, yr hwn trwy dy ddiball ragluniaeth wyt yn llywodraethu pob peth yn y nef, a'r ddaiar; yn ufuddd ni a attolygwn i ti fwrw oddiwrthym bob peth niweidiol, a rhoddi o honot i ni bob peth a fyddo da ar ein llês, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Yr Epistol.

Y Brodyr, dyled-wyr ydym. Rhuf. 8.
gwers 12. hyd w. 18.

Yr Efengyl.

Ymogelwch rhag y. S. Mat. 7.
gwers 15. hyd w. 22.

Y ix Sul gwedi 'r Drindod.

Y Colect.

Caniadhâ i ni Arglwydd, attolwg i ti, yr Yspryd i feddwl ac i wneuthur byth y cyfryw bethau ac a fo cyfiawn, fel y byddo i ni (y rhai ni allwn hebot wneuthur dim sy'dda) allu trwoti fyw yn ôl dy ewyllys, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Yr Epistol.

Ni fynnwn i chwi. 1 Cor. 10.
gwers 1. hyd w. 14.

Yr Efengyl.

Yr Iesu a ddywedodd. S. Luc. 16.
gwers 1. hyd w. 10.

Y x Sul gwedi 'r Drindod.

Y Colect.

Bydded dy drugarogion glustiau, ô Arglwydd, yn agored i weddiau dy ufudd weision, ac fel y bo iddynt gael eu gofynion, gwna iddynt erchi y cyfryw bethau ac a ryngo bodd i ti, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Yr Epistol.

Am ysprydol ddoniau frodyr. 1 Cor. 12.
gwers 1. hyd w. 12.

Yr Efengyl.

Ac wedi iddo ddyfod. S. Luc. 19.
gwers 41. hyd w. 47.

Yr xi Sul gwedi 'r Drindod.

Y Colect.

Duw, yr hwn wyt yn egluro dy Hollalluog nerth, yn bennaf gan ddangos trugaredd a thosturi, yn drugarog dyro i ni y cyfryw fesur o'th Râs, fel y bo i ni gan redeg ar hyd ffordd dy orchymmynion, gyrhaeddyd dy radol addewidion, a chael ein gwneuthur yn gyfrannogion o'th nefol dryssor, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Yr Epistol.*

Yr ydwyf yn yspysu. 1 Cor. 15.
gwers 1, hyd w. 12.

*Yr Efengyl.*

Crist a ddywedodd. S. Luc. 18.
gwers 9. hyd w. 15.

*Yr xii Sul gwedi 'r Drindod.*

*Y Colect.*

HOll-alluog a thragywyddol Dduw, yr hwn yn wastad wyt barottach i wrando, nâ nyni i weddio, ac wyt arferol o roddi mwy nag a archom, neu a ryglyddom, tywallt arnom amlder dy drugaredd, gan faddeu i ni y cyfryw bethau ac y mae ein cydwybod yn eu hofni, a rhoddi i ni y cyfryw ddaionus bethau, nad ŷm deilwng iw gofyn, ond trwy ryglyddon a chyfryngiad Iesu Grist dy Fab di, a'n Harglwydd ni. Amen.

*Yr Epistol.*

Y cyfryw hyder sydd. 2 Cor. 3.
gwers 4. hyd w. 10.

*Yr Efengyl.*

Yr Iesu a aeth. S. Marc 7.
gwers 31. hyd y diwedd.

*Y xiii Sul gwedi 'r Drindod.*

*Y Colect.*

HOll-alluog a thrugarog Dduw, o rodd pwy un yn unic y daw, bod i'th bobl ffyddlon dy wasanaethu yn gywir, ac yn foledic: Caniadhâ, ni a erfyniwn i ti, allu o honom felly dy wasanaethu di yn y bywyd hwn, fel na phallo gennym yn y diwedd fwynhau dy nefol addewidion, trwy haeddedigaethau Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Yr Epistol.*

I Abraham y gwnaethpwyd. Gal. 3.
gwers 16. hyd w. 23.

*Yr Efengyl.*

Gwyn fŷd y llygaid sy. S. Luc. 10.
gwers 23. hyd w. 38.

*Y xiv Sul gwedi 'r Drindod.*

*Y Colect.*

HOll-alluog a thragywyddol Dduw, dyro i ni anghwaneg o ffydd, gobaith, a chariad perffaith, ac fel y gallom gael yr hyn ydd wyt yn ei addo, gwna i ni garu yr hyn yr wyt yn ei orchymyn, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Yr Epistol.*

Yr wyf yn dywedyd. Gal. 5.
gwers 16. hyd w. 25.

*Yr Efengyl.*

Bu hefyd, ac efe yn. S. Luc 17.
gwers 11. hyd w. 20.

*Y xv Sul gwedi 'r Drindod.*

*Y Colect.*

CAdw, attolygwn i ti Arglwydd, dy Eglwys â'th dragywyddol drugaredd: a chan na ddichon gwendid dyn hebot ti onid syrthio, cadw ni byth trwy dy borth oddiwrth bob peth niweidiol, ac arwain ni at bob peth buddiol i'n hiechydwriaeth, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Yr Epistol.*

Gwelwch cyhyd y llythyr. Gal. 6.
gwers 11. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

Ni ddichon neb wasanaethu dau. S. Mat. 6.
gwers 24. hyd y diwedd.

*Yr xvi Sul gwedi 'r Drindod.*

*Y Colect.*

ARglwydd, attolygwn i ti, fod i'th wastadol dosturi lanhau ac amddiffyn dy Eglwys; a chan na all hi barhau mewn diogelwch heb dy fendigedic nodded, cadw hi byth gan dy borth a'th ddaioni, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Yr Epistol.*

Yr wyf yn dymuno. Ephes. 3.
gwers 13. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

A bu drannoeth, iddo. S. Luc. 7.
gwers 11. hyd w. 18.

*Y xvii Sul gwedi 'r Drindod.*

*Y Colect.*

ARglwydd, ni attolygwn i ti fod dy râd bob amser yn ein rhagflaenu, ac yn ein dilyn; a pheri o honot i ni yn wastad ymroddi i bob gweithred dda, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Yr Epistol.*

Deisyf gan hynny arnoch. Ephes. 4.
gwers 1. hyd w. 7.

*Yr Efengyl.*

Bu hefyd, pan ddaeth ef. S. Luc. 14.
gwers 1. hyd w. 12.

*Y xviii Sul gwedi 'r Drindod.*

*Y Colect.*

O Arglwydd, ni a attolygwn i ti ganiadhau i'th bobl râd i wrthladd profedigaethau y byd, y cnawd, a'r cythrael, ac â phur galon a meddwl i'th ddilyn di yr unic Dduw trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Yr Epistol.*

Yr ydwyf yn diolch. 1 Cor. 1.
gwers 4. hyd w. 9.

*Yr Efengyl.*

Gwedi clywed o'r Phariseaid. S. Mat. 22.
gwers 34. hyd y diwedd.

*Y xix Sûl gwedi 'r Drindod.*

*Y Colect.*

ODduw, can na allwn ni hebot ti ryngu bodd i ti, o'th drugaredd caniadhâ fod i'th lân Yspryd ymhob peth union i a llywiaw ein calonnau, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Yr Epistol.*

Hyn gan hynny yr. Ephes. 4.
gwers 17. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

Yr Iesu a aeth. S Mat. 9.
gwers 1. hyd w. 9.

*Yr xx Sûl gwedi 'r Drindod.*

*Y Colect.*

HOll-gyfoethog a thrugarog Dduw, o'th ragorol ddaioni cadw ni, ni attolygwn i ti, rhag pob peth a'n dryga, fel y byddom yn barod yn enaid a chorph i allu â chalonnau rhyddion gyflawni y cyfryw bethau ac a fynnit ti eu gwneuthur, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Yr Epistol.*

Gwelwch gan hynny. Ephes. 5.
gwers 15. hyd w. 22.

*Yr Efengyl.*

Yr Iesu a ddywedodd. S. Mat. 22.
gwers 2. hyd w. 15.

*Yr xxi Sûl gwedi 'r Drindod.*

*Y Colect.*

ODrugarog Arglwydd, ni attolygwn i ti ganiadhau i'th ffyddlawn bobl faddeuant a thangneddyf, fel y glanhaer hwynt oddiwrth eu holl bechodau, ac y gwasanaethont ti â meddwl heddychol, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Yr Epistol.*

Fy mrodyr, ymnerthwch yn. Ephes. 6.
gwers 10. hyd w. 21.

*Yr Efengyl.*

Yr oedd rhyw bendefig. S. Ioan 4.
gwers 46. hyd y diwedd.

*Yr xxii Sûl gwedi 'r Drindod.*

*Y Colect.*

ARglwydd, ni attolygwn i ti, gadw dy deulu, yr Eglwys mewn duwioldeb gwastadol, fel y bo trwy dy nodded ti, iddi gael ei gwaredu oddiwrth bob gwrthwyneb, ac yn ddefosionol ymroi i'th wasanaethu di mewn gweithredoedd da, er gogoniant i'th Enw, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Yr Epistol.*

I'm Duw yr ydwyf yn. Phil. 1.
gwers 3. hyd w. 12.

*Yr Efengyl.*

Petr a ddywedodd wrth. S. Mat. 18.
gwers 21. hyd y diwedd.

*Y xxiii Sûl gwedi 'r Drindod.*

*Y Colect.*

DVw ein nodded a'n cadernid, yr hwn wyt awdur pob dwywolder, gwrando yn ebrwydd ni attolygwn i ti ddefosionol weddiau dy Eglwys; a chaniadhâ i ni am yr hyn ydd ŷm yn ei erchi yn ffyddlawn, allu o honom eu cael yn gyflawn, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Yr Epistol.*

Byddwch gyd-ddilynwŷr. Phil. 3.
gwers 17. hyd y diwedd.

*Yr Efengyl.*

Yna 'r aeth y. S. Mat. 22.
gwers 15. hyd w. 23.

*Y xxiv Sûl gwedi 'r Drindod.*

*Y Colect.*

ARglwydd, attolygwn i ti ollwng dy bobl oddiwrth eu camweddau, fel y byddom trwy dy ddawnus drugaredd ryddion oddiwrth rwymedigaethau ein holl bechodau, y rhai drwy ein cnawdol freuolder a wnaethom: Caniadhâ hyn er cariad ar Iesu Grist ein Harglwydd bendigedig, a'n iachawdr. Amen.

*Yr Epistol.*

Yr ydym yn diolch i. Colos. 1.
gwers 3. hyd w. 13.

*Yr Efengyl.*

Tra oedd yr. S. Mat. 9.
gwers 18. hyd w. 27.

*Y xxv Sûl gwedi 'r Drindod.*

*Y Colect.*

DEffro Arglwydd ni a attolygwn i ti, ewyllyssion dy ffyddloniaid, fel y gallont drwy ddwyn aml ffrwyth gweithredoedd da, gael gennyt ti yn ehelaeth eu gobrwyo, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

*Yn lle yr Epistol.*

Wele y dyddiau yn. Jer. 23.
gwers 5. hyd w. 9.

*Yr Efengyl.*

Yna 'r Iesu a dderchafodd. S. Ioan 6.
gwers 5. hyd w. 15.

¶ *O bydd ychwaneg o Suliau o flaen Sûl yr Adfent, cymmerer gwasanaeth rhai o'r Suliau a adawyd heb ddarllain ar ôl yr Ystwyll, i gyflawni cynnifer ac y sydd yn niffyg yma. Ac os bydd llai, gadawer y rhai a fo tros ben: Profidier fod arfer y Colect, Epistol a'r Efengyl ddiweddaf ymma bob amser ar y Sûl o flaen yr Adfent.*

*Sanct Andreas Apostol.*

*Y Colect.*

HOll-alluog Dduw, yr hwn a roddaist gyfryw râd i'th fendigedig Apostol S. Andreas, fel yr ufuddhâodd efe yn ebrwydd i alwad dy Fab Iesu Grist, ac y dilynodd ef yn ddi-

rwystr:

